FFEITHIAU GWERTH EU GWYBOD

# Gwrandewch! Ewch I Canada

TEITHIWCH GYDA'R

# ALLAN LINE.

MORDEITHIAU WYTHNOSOL

O LERPWL, LLUNDAIN A GLASGOW.

# ALLAN ROYAL MAIL LINE

## RHESTR O'R AGERLONGAU.

| | |
|---|---|
| Agerlong Newydd (Scriws Turbine Dau Ddwbl) . . . . . . | 17,000 o Dunelli. |
| Agerlong Newydd (Scriws Turbine Dau Ddwbl) . . . . . . | 17,000 o Dunelli. |
| VICTORIAN (Tri Scriw Turbine) . | 12,000 o Dunelli. |
| VIRGINIAN (Tri Scriw Turbine) . | 12,000 o Dunelli. |
| CORSICAN (Scriw Dwbl) . . . | 11,500 o Dunelli. |
| GRAMPIAN (Scriw Dwbl) . . . | 10,900 o Dunelli. |
| HESPERIAN (Scriw Dwbl) . . | 10,900 o Dunelli. |
| TUNISIAN (Scriw Dwbl) . . . | 10,576 o Dunelli. |
| SCOTIAN (Scriw Dwbl) . . . | 10,491 o Dunelli. |
| IONIAN (Scriw Dwbl) . . . . . | 8,265 o Dunelli. |
| PARISIAN . . . . . . . . . | 5,395 o Dunelli. |
| CORINTHIAN . . . . . . . . | 7.470 o Dunelli. |
| NUMIDIAN . . . . . . . . . | 4.835 o Dunelli. |
| SICILIAN . . . . . . . . . | 7,470 o Dunelli. |
| PRETORIAN . . . . . . . . | 7,417 o Dunelli. |
| MONGOLIAN . . . . . . . . | 4,837 o Dunelli. |
| CARTHAGINIAN . . . . . . | 4,444 o Dunelli. |

**LLINELL —YR— ALLAN.** Y FLAENAF YMHOB GWELLIANT PWYSIG ER DIOGELIAD, CYSUR, A HWYLUSDOD TEITHWYR.

# CANADA.



## FFEITHIAU GWERTH EU GWYBOD.

MAE CANADA yn fwy na'r Ynysoedd Prydeinig ddengwaith ar hugain, ond er hynny, nid yw ei phoblogaeth ond cyfartal a phoblogaeth Llundain. Mae yno filiynau o aceri o'r tir mwyaf cynnyrchiol yn y byd, ac yng ngwyneb y cyfleusderau sydd i sicrhau cyfran ohono, ni ddylid synnu at y lli o ymfudiaeth i'r wlad. Mae yr ystadegau a gynrychiolir gan y ffigyrau canlynol yn dangos nifer y bobl Brydeinig sydd wedi gadael y wlad hon am Canada yn ystod y deng mlynedd diweddaf:—

| | | |
|---|---|---|
| 1901—11,810; | 1905—65,359; | 1909—52,901 |
| 1902—17,359; | 1906—86,796; | 1910—59,790 |
| 1903—41,792; | 1907 } 175,873: | 1911—123,013. |
| 1904—53,874; | 1908 } | |

Bob blwyddyn, bydd miloedd o Americaniaid yn croesi y cyffiniau i gyfeiriad y Gogledd, oherwydd fod yr amgylchiadau a'r rhagolygon yn llawer gwell na'r hyn ydynt yn eu gwlad hwy. Er y flwyddyn 1903 mae ymfudiaeth i Canada wedi cynnyddu yn fawr, ac mae y rhai sydd yn wybyddus a'r amgylchiadau yn gwybod fod miloedd o'r dynion ieuainc sydd wedi gadael Prydain Fawr heddyw yn "gwneud yn dda" a'r ffermydd o'u heiddo eu hunain. Yn naturiol dechreuasant weithio ar ffermydd sefydledig hyd nes yr

oeddynt yn gymhwys a pharod i gymeryd mantais o Rodd Rad o 160 o aceri o dir gan Lywodraeth Canada. Ac y mae llawer ohonynt wedi ychwanegu at hynny trwy bwrcasu tir arall. Mewn canlyniad, y maent wedi achosi gofyn mawr am lafur. Mae y sicrwydd o dal da am waith, ac o lwyddiant, yn egluro y lli o ymfudiaeth i Canada. Eglura tabl cyflogau ar dudalenau 6 a 7 ei hun.

## Paham y mae Pobl yn myned i Canada?

Mae'n amheus a werthfawrogwyd adnoddau naturiol diderfyn Canada hyd nes yn ddiweddar, ond yn awr y mae cyfoeth y wlad wedi ei brofi, ac y mae y rhagolygon disglaer o lwyddiant yn atdynu ugeiniau o filoedd o weithwyr diwyd—dynion anturiaethus ac uchelgeisiol—yn awyddus am wella eu hamgylchiadau.

Y mae lle i bob dyn brwdfrydig yn holl ganghenau llafur, ac yn enwedig y mae cyfleusderau euraidd i rai wedi arfer gweithio mewn ffermydd.

Dymuna Llywodraeth Canada wneud yn hysbys fod :

"Gwaith i bawb ar y tir."

"Fod Canada am fwydo yr Ymherodraeth."

"Y rhoddir ffermydd o 160 o aceri yn rhad."

Os mai llafurwr ar fferm ydych, a oes posibilrwydd i chwi berchenogi fferm eich hunan yn y wlad yma? Mae yr amgylchiadau presennol yn profi yn glir mai anhebyg iawn yw hynyna; mewn gwirionedd, y mae yn anhawdd cael bod yn denant. Felly, am fod Canada yn cynnyg rhagolygon mor ardderchog,

priodol fyddai ysgrifennu at Linell yr Allan, neu at unrhyw un o'r cynrychiolwyr awdurdodedig, am bamphledau, etc., yn rhoddi manylion llawnach. Cewch hefyd gopiau o lythyrau oddiwrth bersonau, wedi manteisio ar y cyfleusderau, yn llwyddo yno.

**Ceir Rhoddion Rhad o Dir** yn Nhalaethau New Brunswick ac Ontario. Rhoddir o gant i ddau gant o aceri. Yn Manitoba, Saskatchewan ac Alberta, rhoddir 160 o aceri i bob pen teulu, ac i bob mab, pan bydd yn ddeunaw oed, ar y telerau fod y person yn preswylio ar y rhan roddir am chwe mis ymhob un o'r tair blynedd cyntaf, ac y bydd iddo amaethu, y fan leiaf ddeg ar hugain o aceri. Yr unig amod arall ydyw fod y swm o 2p 1s 4c yn cael ei dalu ar gyfer y gost o gofrestru y teitl. Gellir prynu tir ardderchog yn agos i'r marchnadoedd yn Manitoba, y Talaethau yn y Gogledd Gorllewin (North West Territories), a British Columbia, am 3p i 7p yr acer.

**Ffermwyr.**—Yn ddiamheuol y mae yno gyfleusderau a manteision ardderchog i amaethwyr gydag ychydig o gyfalaf. Gellir pwrcasu ffermydd da yng ngwahanol rannau o'r wlad am brisiau rhesymol, ond argymhellir yn gryf fod holl ymofyniadau yn cael eu gwneud gyda **Cynrychiolydd Llywodraeth Canada** yn y rhan a benderfynir arni, ac fe 'rydd hwnnw y wybodaeth oreu a mwyaf ymddiriedol. Mae hyn o'r pwysigrwydd mwyaf.

Mae mwy o ofyn yng Nghanada am **Lafurwyr Amaethyddol** nag unrhyw ddosbarth arall. Estynir

---

**Newidir Arian Nodau arbenig y Cwmni yn eu prif swyddfeydd yn Canada.**

## TABL O GYFLOGAU DELIR YN CANADA YN RHOI AMCAN GYFFREDINOL YN UNIG.

Wedi ei gymeryd o Ffigyrau a roed yn Labour Gazette Llywodraeth Canada.

| | Nova Scotia a New Brunswick. | Quebec. | Ontario. | Manitoba. | Saskatchewan ac Alberta. | British Columbia. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Gweision Fferm (yn cynwys bwyd llety) y mis | 4p i 6p | 3p i 6p | 4p i 7p | 5p i 7p 10s | 5p i 8p | 5p i 9p |
| Gweision Fferm ,, ,, ,, y flwyddyn | 35p i 45p | 35p i 45p | 40p i 50p | 40p i 60p | 45p i 60p | 50p i 65p |
| Garddwyr a Garddwyr Marchnad . . . . . | 3p i 4p y mis. | 3p i 4p y mis. | 4s i 7s 6c y dydd. | 5s i 7s 6c y dydd. | 5s i 7s 6c y dydd. | 6s i 10s y dydd. |
| Morwynion ar Ffermydd . . . . . . . y mis | 2p i 3p | 2p i 3p | 2p i 3p | 3p i 4p | 3p i 4p | 3p i 5p |
| Morwynion . . . . . . . . . . y mis | 2p i 3p | 2p i 3p | 2p i 4p | 3p i 4p 10s | 3p i 4p 10s | 4p i 6p |
| Cogyddion (Cooks) . . . . . . . . y mis | 3p i 4p | *3p i 5p | 3p i 5p | 4p i 5p | 4p i 5p | 5p i 8p |
| Seiri . . . . . . . . . . . . y dydd | 7s i 9s | *7s i 9s | 8s i 10s | 10s i 14s | 10s i 14s | 14s i 16s |
| Plastrwyr . . . . . . . . . . . y dydd | 10s i 14s | *10s i 14s | 12s i 14s | 12s i 16s | 12s i 16s | 14s i 20s |
| Plumbers . . . . . . . . . . . y dydd | 8s i 10s | *8s i 10s | 10s i 12s | 12s i 16s | 12s i 16s | 12s i 14s |
| Seiri Meini . . . . . . . . . y dydd | oddeutu 16s. | oddeutu 16s. | oddeutu 16s. | 16s i 18s | 14s i 20s | 14s i 21s |
| Bricklayers . . . . . . . . . y dydd | 10s i 14s | 10s i 14s | 10s i 14s | 16s i 18s | 14s i 20s | 14s i 21s |
| Labrwyr Cyffredin . . . . . . . y dydd | 5s i 6s | 5s i 6s | 5s i 8s | 6s i 9s | 6s i 9s | 6s i 10s |
| Labrwyr ar Reilffyrdd . . . . y dydd | 5s i 7s | 6s i 8s | 6s i 8s | 5p i 7p cynnwys | y mis yn bwyd a | yr Haf yn llety. |
| Glowyr . . . . . . . . . . . y dydd | 8s i 12s | . . . . . | . . . . . | . . . . . | 12s i 14s | 12s i 16s |
| Cyplau Priodasol (gwaith fferm profiadol) y flwyddyn | 55p i 60p | . . . . . | 55p i 60p | 60p i 75p | 60p i 75p | 60p i 80p |

* Mae y Ffigyrau yn Montreal yn uwch.

**PRIF ANGEN CANADA: Gweision Ffermydd a Morwynion.**

## TABL O GYFLOGAU DELIR YN CANADA YN RHOI AMCAN GYFFREDINOL YN UNIG.

**Wedi ei gymeryd o Ffigyrau a roed yn Labour Gazette Llywodraeth Canada.**

| | Nova Scotia a New Brunswick. | Quebec. | Ontario. | Manitoba. | Saskatchewan ac Alberta. | British Columbia. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Gweision Fferm (yn cynwys bwyd llety) y mis | 4p i 6p | 3p i 6p | 4p i 7p | 5p i 7p 10s | 5p i 8p | 5p i 9p |
| Gweision Fferm ,, ,, ,, y flwyddyn | 35p i 45p | 35p i 45p | 40p i 50p | 40p i 60p | 45p i 60p | 50p i 65p |
| Garddwyr a Garddwyr Marchnad . . . . . | 3p i 4p y mis. | 3p i 4p y mis. | 4s i 7s 6c y dydd. | 5s i 7s 6c y dydd. | 5s i 7s 6c y dydd. | 6s i 10s y dydd. |
| Morwynion ar Ffermydd . . . . . . . y mis | 2p i 3p | 2p i 3p | 2p i 3p | 3p i 4p | 3p i 4p | 3p i 5p |
| Morwynion . . . . . . . . . . . . y mis | 2p i 3p | 2p i 3p | 2p i 4p | 3p i 4p 10s | 3p i 4p 10s | 4p i 6p |
| Cogyddion (Cooks) . . . . . . . . . y mis | 3p i 4p | *3p i 5p | 3p i 5p | 4p i 5p | 4p i 5p | 5p i 8p |
| Seiri . . . . . . . . . . . . y dydd | 7s i 9s | *7s i 9s | 8s i 10s | 10s i 14s | 10s i 14s | 14s i 16s |
| Plastrwyr . . . . . . . . . . . y dydd | 10s i 14s | *10s i 14s | 12s i 14s | 12s i 16s | 12s i 16s | 14s i 20s |
| Plumbers . . . . . . . . . . . y dydd | 8s i 10s | *8s i 10s | 10s i 12s | 12s i 16s | 12s i 16s | 12s i 14s |
| Seiri Meini . . . . . . . . . . y dydd | oddeutu 16s. | oddeutu 16s. | oddeutu 16s. | 16s i 18s | 14s i 20s | 14s i 21s |
| Bricklayers . . . . . . . . . . y dydd | 10s i 14s | 10s i 14s | 10s i 14s | 16s i 18s | 14s i 20s | 14s i 21s |
| Labrwyr Cyffredin . . . . . . . . y dydd | 5s i 6s | 5s i 6s | 5s i 8s | 6s i 9s | 6s i 9s | 6s i 10s |
| Labrwyr ar Reilffyrdd . . . . . . y dydd | 5s i 7s | 6s i 8s | 6s i 8s | 5p i 7p cynnwys | y mis yn bwyd a | yr Haf yn llety. |
| Glowyr . . . . . . . . . . . . y dydd | 8s i 12s | . . . . . | . . . . . | . . . . . | 12s i 14s | 12s i 16s |
| Cyplau Priodasol (gwaith fferm profiadol) y flwyddyn | 55p i 60p | . . . . . | 55p i 60p | 60p i 75p | 60p i 75p | 60p i 80p |

* Mae y Ffigyrau yn Montreal yn uwch.

# PRIF ANGEN CANADA: Gweision Ffermydd a Morwynion.

cyfleusdra arbennig i'r gweithiwr egniol, ufudd, a chryf. Erbyn hyn, mae y teimlad gwladgarol oedd yn cadw y dynion ieuainc gartref o dan yr hen amgylchiadau wedi gorfod cael eu rhoddi o'r neilldu. Mae dynion heddyw yn gorchfygu y rhwymau hyn, ac yn ymfudo i Canada, ac felly yn cael mynediad i fywyd newydd o dan amgylchiadau gwahanol. Ac ardderchog yw'r canlyniadau. Yn ol y Llywodraeth ei hunan, mae gofyn diderfyn am lafurwyr amaethyddol ymhob rhan o Canada ar gyfrif y cyflymdra gyda pha un y mae tir yn cael ei feithrin; ac yn ddiamheuol y mae'r cyflogau yn ffafriol.

**Gweision Ffermydd Profiadol;** y mae y rhai hyn yn derbyn o 50p i 65p y flwyddyn.

**Gweision Ffermydd heb fod yn brofiadol;** derbyniant hwy o 26p i 30p. Y mae y cyflog yma, wrth gwrs, yn cynnwys bwyd a llety.

**Morwynion.**— Teimlir prinder morwynion yn fawr yng Nghanada. Dylid cadw mewn cof mai dynion yn gwneud dechreuad newydd ydyw y mwyafrif o'r personau sydd wedi gadael y wlad hon am Canada. Felly y mae yn amlwg fod prinder o forwynion.

Ceir prawf o hyn yn y ffaith fod Llywodraethau Talaethol Canada yn gwneud eu goreu, trwy eu gwahanol gyfryngau, i wneud yn hysbys y gofyn mawr sydd am forwynion, y rhai sydd yn sicr o waith ar hyd a lled Canada.

**Seiri, Seirimeini, Bricklayers** a gweithwyr eraill ynglyn âg adeiladu.

---

**Merched profiadol yn gofalu am ferched ieuainc yn teithio gyda llongau Llinell yr Allan.**

Mae'n rhaid i'r darllenydd weled, yng ngwyneb y cannoedd sydd yn ymfudo i Canada; llwyddiant y wlad, a'r ffaith fod trefi newydd yn cael eu ffurfio yn gyflym, ac fod y trefi presennol yn cael ychwanegu atynt, fod galwad mawr am weithwyr. Mae gwelliannau yn y trefi yn myned ymlaen gyda chyflymdra rhyfeddol, ac y mae dadblygiad y trefi a'r dinasoedd yn y Gorllewin, yn brawf tarawiadol o bosibilrwydd y wlad.

**Pryd i fyned i Canada.**—Yr amser goreu ydyw yn fuan yn y Gwanwyn. Ym mis Mawrth, a thrwy fisoedd yr haf, bydd galwad mawr am weision ffermydd. Yn y cyfnod hwn bydd yr amaethwyr a'u llygaid yn agored am ddynion ar gyfer gwaith y tymhor. Yn nechreu'r gwanwyn, bydd prysurdeb mawr yn myd adeiladwaith; dyma'r adeg i gael cychwyn da.

Gall morwynion gael lleoedd heb drafferth ar unrhyw adeg o'r flwyddyn.

**Sut i gael Lle.**—Dylai llafurwyr amaethyddol a morwynion ar ol cyrhaedd Canada, ymofyn a Chynrychiolydd Llywodraeth Canada yn ddioed. Rhydd ef bob cynnorthwy. Ceir rhestr o'r cynnrychiolwyr yma gan unrhyw un o gynnrychiolwyr Llinell yr Allan os gofynir am dano.

Dylai y rhai hynny fwriada gael lle yn y rhannau canlynol anfon at—

Yn Nova Scotia, The Dominion Government Immigration Agent, Halifax, N.S.

Yn New Brunswick, Mr J. V. Lantalum, Dominion Government Immigration Agent, S. John, N.B.

---

**Y ffordd rhataf i leoedd yn Ngorllewin yr Unol Dalaethau ydyw trwy Canada.**

Yn Quebec, Dr J. P. Lavoie, Immigration Agent.

Yn Montreal, Mr J. Hoolahan, Immigration Agent, 306, St. Antoine Street.

Yn Winnipeg, Mr J. Bruce Walker, Commissioner of Immigration, office adjoining C.P.R. Station.

Hefyd, mae gan y Llywodraeth gynnrychiolwyr ynglyn âg Ymfudiaeth yn y rhàn fwyaf o drefi pwysig Canada, gan y rhai y ceir y cynghorion a'r cyfarwyddyd goreu.

**Cyflogau yng Nghanada.**—Dyma fater pwysig i benderfynu, a yw yn ddoeth ymfudo ai peidio. Rhydd y tabl ar dudalenau 6 a 7 syniad da am yr amgylchiadau cyffredinol.

**Costau Byw yn Canada.**—Mae llawer o dan yr argraff fod costau byw yn Canada yn uchel, ac felly, er y telir cyflogau da, ni enillir budd ymarferol. Yng ngwyneb hyn priodol ydyw i ni ddifynu o **Lawlyfr y Llywodraeth Brydeinig** ar Canada. Gellir ymddiried yn hwnnw, yn sicr. Hyn a ddywed:—

> "Mae angenrheidiau bywyd, ond dillad a thanwydd, ar y cyfan yn rhatach nac ydynt yn y Deyrnas Gyfunol. Mae moethau bywyd yn ddrutach, ac y mae costau byw yn gyffredinol yn uwch na'r hyn oeddynt. Cyst tanwydd. dillad, rhent, a morwynion fwy nac adref, ond y mae BWYD A LLETY I DDYNION SENGL YN RHESYMOL. YN SICR DYLAI GWEITHIWR DA FOD YN ABL I HEL ARIAN."

Fel y sylwir, yn ymarferol gyda moethau bywyd y mae y gost gynnyddol. Ac am fod holl ymfudwyr yn dueddol i roi moethau o'r neilldu am amser, gallant hel arian oherwydd derbyniant gyflogau gwell.

---

Gwasanaeth wythnosol o Lerpwl, Llundain, Glasgow a Londonderry.

**Manylion Pellach.**—Unig bwrpâs y llyfryn hyn ydi galw sylw at yr amgylchiadau cyffredinol. Bydd yn bleser gan Linell yr Allan, ar dderbyniad cais yn un o'r Brif Swyddfeydd, neu gyda un o gynnrychiolwyr y Llinell, anfon, yn rhad, lyfrau yn delio yn fanwl gydag amgylchiadau yn y gwahanol Dalaethau.

**Treuliau y Daith.**—Fel y canlyn y mae treuliau (yn agored i gyfnewidiadau) i'r prif drefi :—

| | 3ydd Dosbarth yn yr agerlong. Colonist Class Rail. | | | 2il Ddosbarth yn yr agerlong. Colonist Class Rail. | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Quebec, uniongyrchol | £6 | 5 | 0 | £10 | 0 | 0 | |
| Montreal, trwy Quebec | 6 | 18 | 9 | 10 | 0 | 0 | uniongyrchol. |
| Halifax neu St. John, N.B. | 6 | 5 | 0 | 10 | 0 | 0 | uniongyrchol. |
| Battleford, Sask. | 11 | 11 | 1 | 15 | 6 | 1 | |
| Brandon, Man. | 10 | 5 | 8 | 14 | 0 | 8 | |
| Calgary, Alberta | 11 | 15 | 0 | 15 | 10 | 0 | |
| Edmonton, Alberta | 12 | 3 | 2 | 15 | 18 | 2 | |
| Fernie, B.C. | 12 | 2 | 1 | 15 | 17 | 1 | |
| Fort William, Ont. | 10 | 0 | 0 | 13 | 15 | 0 | |
| Hamilton, Ont. | 7 | 18 | 7 | 11 | 12 | 6 | trwy Montreal. |
| | | | | 11 | 13 | 7 | trwy Halifax. |
| Regina, Sask. | 10 | 15 | 0 | 14 | 10 | 0 | |
| Saskatoon, Sask. | 11 | 2 | 6 | 14 | 17 | 6 | |
| Toronto, Ont. | 7 | 18 | 7 | 11 | 7 | 9 | trwy Montreal |
| | | | | 11 | 13 | 7 | trwy Halifax. |
| Winnipeg, Man. | 10 | 0 | 0 | 13 | 15 | 0 | |
| Vancouver, B.C. | 14 | 8 | 7 | 18 | 3 | 7 | |
| Victoria, B.C. | 14 | 15 | 3 | 18 | 10 | 3 | |

Bydd y pris cludiad i'r rhai hyny yn teithio gyda'r agerlongau Turbine "Victorian" a'r "Virginian" yn fwy o 5/- yn y trydydd dosbarth ac o 10/- yn yr ail.

Mae'r prisiau am deithio gyda rhai o'r agerlongau yn teithio o Glasgow a Llundain ychydig yn is na'r uchod.

PRISIAU CLUDIAD I DREFI ERAILL I'W CAEL

Am fanylion pellach ymofyner a

# ALLAN BROS. & Co., U.K. Limited,

19, James Street .. LIVERPOOL
14, Cockspur Street, LONDON, S.W.
103, Leadenhall St., LONDON, E.C.
50, Foyle Street .. LONDONDERRY
25, Bothwell Street, GLASGOW.
4, India Buildings, DUNDEE

NEU UN O'N CYNRYCHIOLWYR.